David Owen

# AWDL
# ELUSENGARWCH:

SEF

*TESTYN Y GWYNEDDIGION*

# I EISTEDDFOD DINBYCH,

**Hydref 6, 1819.**

*GAN DEWI WYN O EIFION.*

Gwyn ei fyd a ystyria wrth y tlawd: yr Arglwydd a'i gwared ef yn amser adfyd. SAL. XLI. 1.

Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd; a'i rodd a dâl efe iddo drachefn. DIAR. XIX. 17.

Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os ewyllysi fod yn berffaith, dos, gwerth yr hyn sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi. MATTH. XIX. 21.

Crefydd bur, a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad, yw hyn; Ymweled a'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd. IAGO, I. 27.

Farnydd, darllenydd dewr, llon,——ymholydd
Am helynt Prydyddion;
"Edrych y Gerdd, Hir-gerdd hon,
"Gwanafau GWYN O EIFION."

Caernarfon:
ARGRAPHWYD GAN PETER EVANS,
TROS YR AWDWR.

*Pris Chwe-cheiniog.*

1820

# LLYTHYR

# AT FEIRDD CYMRU.

FY NGHYFOESWYR DEWRION.

BID wiw genych synied mai yr achlysur i mi gysoddi y Farddoneg ganlynawl, a fu cyhoeddiad y GWYNEDDIGION, at Feirdd Cymru, a ymddangosodd yn Seren Gomer, y Gorphenaf diweddaf; rhan o'r hwn sydd fel y canlyn,

"Testyn y GWYNEDDIGION i'r Beirdd, y flwyddyn hon, yw ELUSENGARWCH.

## At Feirdd Cymru.

Bydded hyspys i'r BEIRDD, y cynhelir EISTEDDFOD, i ystyried ymdrech y Beirdd ar y Testyn uchod, y mercher cyntaf ar ol Gwyl Fihangel nesaf, sef y 6ed o Hydref, yn arwydd y GORON, yn nhref DDIMBYCH; lle y bernir yn gyhoedd yr amrywiol gyfansoddiadau Barddonol a anfoner yno, (yn ddidraul;) a'r gwaith a dybier yn odidocaf gan y Beirniaid, awdwr y cyfryw a wobrwyir â THLWS ARIAN hardd, gan GYMDEITHAS y GWYNEDDIGION, yn ol defod ac arfer."

Gogyfer a'r amodau uchod, cyflwynais Arwrgân i'r ymrysonfa freiniol; ond, yn lle "BARNU YN GYHOEDD" yn ol yr addewid argraphedig, tori amod, gan dra-ddodi gwagesgus, debygwn i, dros ohirio'r ddedfryd o'r 6ed i'r 25ain o'r mis a wnaed; a gosod baich gorthrwm ar amynedd 15 o ymdrechwyr difrifol, i ymaros am hanes eu gorchestion, heb gymaint a dychon i un o naddynt wybod fod ei Awdl wedi cyr-haedd y Frawdle; gan nad oeddid wedi cyhoeddi yr un o'r arwyddenwau. (Ymddyg-iad diolchgar ac anrhydeddus, er calondid i'r Beirdd, onid e? Ond beth bynag, er boddlondeb i bawb mae'n debyg, wedi'r 25ain o'r mis, dyma gyhoeddiad mai Awdl y DRYW oedd wedi derbyn y gamp; heb un awgrym i feddwl fod un awdwr arall we-di medru gwneyd gwerth ei enwi. Gan fod hyn yn ymddygiad cwbl ddyeithrol, def-nyddiais y synwyr oedd genyf, yn prydu fy Awdl yn ddichlynaidd, i chwilio os gall-wn i drwch y blewyn, a oedd y pethau hyn felly: bûm lwyddianus i wybod na chawsai'r GWYNEDDIGION yn Nghaer Ludd y fraint o weled yr un o'r 15 Awdl, ond eiddo y DRYW yn unig: ac i goroni yr holl anrhydedd a'r fuddugoliaeth werth-fawr, yr oedd y DRYW awenlyd a dysgedig gwedi anfon i Gaer Ludd i grefu am ei Awdl adref i'w diwygio, fel hyn ac fel arall, cyn ei chyhoeddi; a'r GWYNEDD-IGION teimladwy, a chyfion hefyd, wedi cydsynio a'i gais gorwael a gresynol. Ow! Ow!

Ni rusais anfon Llythyr cyhoeddus at y Gymdeithas i ganmol yr ymddygiadau, a thystio iddynt fod y pethau hyn yn fy llwyr foddloni, nad oedd y DRYW i'w ofni genyf ond llai na chyn dechreu'r Feirniadaeth, pe buasai fodd: er na haeraf nad oedd ond odid 3, ie 13, o'r 15 wedi rhagori arnaf. Gyda hyn dyma Dri o'm cyfeillion yn ymweled â mi, sef D. DDU ERYRI, GWYNDAF ERYRI, a'm Cynathro R. AB GWILYM DDU EIFION, ac oll yn cyd dd'weyd yn fy wyneb fod, nid yn unig fy achos fy hun, ond achos y bŷd barddonawl yn gyffredinol, hefyd, yn galw arnaf i frysyru fy Awdl drwy'r Wasg; gan nad oedd sill o siw na miw fod neb arall yn me-ddwl cyhoeddi Awdl nac enw neb ond eiddo y DRYW yn unig. A thrwy gefnogaeth eu cymelliad hwy, dyma fi yn profi i'r bŷd, na fedr un clêrfardd na chlêrfeirniad sydd heddyw yn Ninbych; nac un Gymdeithas anrhydeddus sydd yn Nghaer Ludd, eleni, ddim sathru fy mhen awenyddol ar heol eu pleidgarwch. Gresyn fod creadur-iaid rhesymol, fel yr Estrys ddi-synwyr, yr hon pan guddio ei phen, fel nas dychon hi weled eraill, a dybia'n ddyogel na wêl eraill hitheu, nes teimla flaentroediad haedd-ianol, disymwyth yn rhoi iddi chwyldro, oni b'o ei phlyf fel dyrnaid o ûs ar led yr awyr: ac os gallodd rhywrai yn gyffelyb fachellu fy Arwyrain, yn lle ei hanfon i Gaer Ludd yn ddyladwy i sulw'r gwobrwyr, &c. ni fedrant fawr fy lluddias i i'w hanfon i Gaer Salwg i'w hargraphu; yr hwn argraphiad o Awdl anllwyddianus a rydd her noeth, hyd oni argrapher rhyw Awdl fuddugol ac ariandlysog i'w hefelychu, ac yn enwedigol o waith neb o Ddysgedigion perffeithiedig ac urddedig Coleg Rhydychen;

ac wedi ei chysoddi gan un dynsawd o fewn cylch y flwyddyn dra gorchestol a aeth heibio, ïe a'r flwyddyn flaenorol hefyd; canys nid iawn yw anghofio Eisteddfod ddirgeledig, olaf Llanelwy, am gyflawn hanes a gwybodau o oreufardd ac Awdlau, (yn neillduol Awdl fuddugol) yr hon a ddirboenodd rai o'r ymrysonwyr yn fwy debygid nag wrth fyfyrio eu caniadau.

Wel tybaid nad oes cyfansoddiad rhyw ŵr urddasol, yn nod yr holl ymdrechaeth, wedi tra rhagori ar eiddo dynyn gwerinaidd a distadl fal myfi; ac os oes, er mwyn cariad i'n gwlad, cariad i'r awen a phob daioni, gadewch ei weled yn argraphedig; bydd yn fri i'r Awdwr, ac yn foddlondeb i rifedi mawr o Feirdd a Llenyddion beirniadol, ac o leiaf yn hyfrydwch dirfawr i minnau ei ddarllen a'i fynych ddadgan: felly caiff yr oes oleu hon (ïe yr oloesolion) weled, a barnu yn ddiduedd pa un ai'r Gaer wen ai'r Gaer Fyrddin a fydd wedi rhoi yr arddangosiad a'r prawf grymusaf o awenydd a chyffredion Cymroawl i'r byd barddonol yn y flwyddyn 1819, pan gynaliwyd Eisteddfod rwysgfawr a drudfawr yn Nghaerfyrddin, dan nodded y Gymdeithas Gymroaidd, ag na bu ei chynllun o haelioni ac anrhydedd er's amryw gannoedd o flynyddau yn Nghymru, os erioed yn Ynys Prydain: (dau o gyfansoddiadau buddugol hon a welais i eto, sef Englyn y Delyn, a Marwnad ein diweddar Frenhines,) ac os ymddengys, fal yr wyf yn gordybio, mai fy nghyfansoddiad i fydd y gwerthfawrocaf a thragodidocaf; gwybydded pawb, yn enwedigol fy nghym'dogion, y byddaf dra phell oddiwrth bob math o ymffrost; canys pe felly, ni byddai genyf sail i ddysgwyl yn amgen nad rhyw hogyn tylotaf a distadlaf o fewn rhyw gymydogaeth yn Nghymru a fydd cyn pen nemor yn fy nisodli yn ddiboen y'ngorchest y Gerdd dafawd, &c.

Ysgrifais y llinellau uchod mor wrolfrydig, gan obeithio y byddant fel blaen trosol i godi Awdlau buddugol o'u hen dyllau lle maent yn godechu; neu beri i'w hachleswyr gyfaddef eu bod yn gywilydd eu gweled. Ac yr wyf yn dysgwyl im' foddio Beirdd Cymru yn gyffredinol; ac nis'm dawr o digiodd y Beirniaid yn ddi achaws.

Cyn belled ag y mae dysglaerdeb a gwychedd anian yn gorwedd ar y cyfansoddiad canlynol, cyfrifer y gogoniant yn unig i'r hwn a'm gwnaeth i a'm hawenydd; nid oes dim anrhydedd yn ddyledus i mi a'r ysgrif-bin ond fel offerynau. Nid allaf ameu na bydd yr Awdl hon, yn ei hiaith, yn arddangos gogonedd y Bôd mawr fel creuawdydd a rhoddwr doniau; ac na bydd er dyddanwch moesol i laweroedd o rai sy'n deall y gymraeg ac ansawdd ei barddoni, gan nad oes ynddo, hyd y gwn, ddim tueddiadau llygredig, ond ei fod yn addas, i ryw raddau, i'r Testyn teilwng y mae arno: darfu i mi ei gysoddi, nid yn unig wrth rym cof a deall, ond hefyd oddiar deimladau melysion a sobreiddiol; ac hyd yr wyf yn deall, gellir dysgwyl bendith arno i'r darllenydd ystyriol: dyna yw gwan ddymuniad yr awdur, yr hwn wyf eto yn parhau yn salw ac iselfryd, eich eiddo, &c.

DAFYDD OWEN.

Y Gaerwen yn Eifionydd,
Ionawr 3, 1820.

---

## GWALLAU 'R ARGRAPHWASG.

| TU DAL. | LLINELL | YN LLE | DARLLEN |
|---|---|---|---|
| 5. | 12. | beichiau | ei beichiau |
| 7. | 42. | Ow Och! | Ow Oh! |
| 18. | 1. | oll | allodd |
| 22. | 2. | hon a'u | hon eu |
| 23. | 18. | wayw ei | wayw eu |
| 24. | 26. | ddaionus | haelionus |
| —. | 29. | y'mwrdd | 'y mwrdd |



# AWDL

# *ELUSENGARWCH:*

TESTYN Y GWYNEDDIGION I EISTEDDFOD DINBYCH,

Hydref 6, 1819.

---

GEIRIAU Elusengarwch;
  Pob paladr yn fladr a fflwch,
  Mae plyfyn i'm palf yn awr,
  Cof-adail fawr cyfodwch.
Gwel yma, O! golomen,——cain feindwr,
  Cwynfandy yr angen;
  Golwg iawn, amlwg o'i nen,
  Ar lysoedd yr Elusen.
Gwel dylodion, a gwael adeiladau;
Gwragedd, plant, a thrichant o wrthrychau;
Ymddifaid, gweddwon, wareiddion ruddiau;
Un a dŷn bychan yn dwyn beichiau;
Dŷn feichiog, lwydion fochau,——mewn angen
Gweled Elusen,—dan gelyd loesau.
Lluoedd ar luoedd ar welyau,
Rhwng cilddaint echrysaint a chroesau;
Holl awch danedd y llychedenau;
Chwerw ffrewyll, fflengyll a phla angau;
Gan anghenion, cwynion yn cynau;
Elusen deimla'u heisiau,——a'i chynes,
Garüaidd fynwes, eu griddfanau.
Pechodau, a chwymp chwai Eden,——a'u dug
  I dagwm yr angen:
  Yn rhodd anfonodd nef wen,
  O law Iesu Elusen.
  Disgynodd Duwies gwiwnef,
  I'n daear ni, do o'r nef:
  Llysoedd Brenhinoedd heini
  Is law ei holl sulw hi;
  Chwyddai serch y Dduwies hon
  At aelwydydd tylodion:
  Agor o'i thrysor wrth raid,—
  A'i ranu i drueiniaid.

Ni lysir, gan Elusen,
Un cnawd, yn ieuanc na hen:
Edwyn eisiau dyn isel;
Yn hen a gwan, hon a'u gwel:
A gnawd i hon gwneyd, o hyd,
Hen elyn ei hanwylyd!
Dau anwylyn dynoliaeth,
Brawdyn a gelyn, nid gwaeth.
Haelionus i'w elynion
Euog a drwg, ydyw'r Ion:
Bôd, einioes, pob daioni,
A roes Ner, o'i ras, i ni:
Pob peth yn ddifeth, hyfwyn;
Rhoi ei un mab er ein mwyn:
A mwy braint, y mab a roes,
Do, in' ei waed a'i einioes.
Nineu, na fyddwn anhael,
O'i eiddo'i hun i Dduw hael:
Mor hawdd, yma yw rhoddi;
Rhoddion Ion yw'r eiddaw ni.
Yn awr, Ai rhoi mawr im' yw?
Na, dyled, neu dâl ydyw.
Dadleudy i dylodion,
Ei dŷ sydd, Pwy dawai son?
A rodder i'w rai eiddil,
Llesg, mân, lliosoga mil:
Ei blant Ef a'i bobl y'nt hwy;
Dibrin rhydd eu Tad wobrwy.
Pan yw blew gwallt pen ei blant——o dan rif,
Da in' roi eu porthiant;
Eu galw, cyn hir, gwir, a ga'nt,
I giniaw y gogoniant.
Gwel'd brawd ar ddelw 'nghreuawdwr;
A delw Duw ar dylawd wr;
A chofio 'nhlawd Iachawdwr,
Fu un dydd yn gofyn dwr,
A enyna, yn uniawn,
Fy nhymer dyner a'm dawn.
Haner yr eiddof, yn awr, a roddwn;
Ac heb ail wrtheb, y cwbl a werthwn,
I roi yn hael er Enw hwn:——Teyrnasoedd,
Llawnder y Bydoedd oll, nid arbedwn.

Rhoi o hyd yw 'mryd a 'mraint;——daioni
Yw nad wn ogymaint:
Dwyn iawn serch, dynion a Saint,
Dan deimlad cariad ceriaint.
Mewn ystyr, brodyr o un bru ydym;
Ar y cyntaf, yn Addaf, un oeddym:
Ni, i gyd oll, un gwaed y'm,——yn ddiddadl,
Un cnawd ac anadl, ac un Duw genym.
Yn amodau hunanymwadiad,
Caed amod amlwg cydymdeimlad:
Cyraedd deheulaw cariad——i bob dyn,
Pe b'ai yn elyn:— pawb un alwad;
Pe'r *Tyrciaid*, pe'r *Awstriaid*, pob rhyw estron,
Pe b'ai wael alltud o blith pobl wylltion;
Arddel pob *Gwyddel* a gwiddon,——cofiwch,
Er bod dyngarwch. trwy'r byd, dan goron.
Porthaf bobl o bob parthau,——a byddaf
Yn porthi nesaf perthynasau:
Rhoi i'r rhai bach, ar air byr,
Cu frodyr, eu cyfreidiau.
Ystyriaf, teimlaf at ham——hen wraig glaf,
Hen wr cloff, ysgwyddgam;
Helynt gwrach legach, law-gam,
Mal ethryb modryb a mam.
Fy nw'r hallt yn ddafnau rhed,
Uthr weled f'ewythr WILIAM;
Mamau, hen neiniau anwyl,
I'r drysau, mewn eisiau'n wyl:
O! 'rhen wr, mor druan yw!
Fy hen daid, fy nhad ydyw:
Troednoeth a phennoeth, â'i ffon,
A'i gydau dan fargodion.
GWGAN oedd, nid gwag o nerth,
Ac arno wir ddelw GWRNERTH;
O gyneddfau gweinyddfawr,
CYRUS, AHASFERUS fawr.
Be'n eistedd yn Senedd SIOR;
Ef i'w chanol f'ai 'i Chynor:
Ac i'w Deyrnben, cadarnbwynt
Y lluniai hi'n well no hwynt.
Nid oes yn nau Dŷ y Senedd——ei well;
Ow! Och! mae'n beth rhyfedd,

Na wnaed hwn yn Ynad hedd;
Neu Frenhin o fawr rinwedd.
Ond yn lle hyn, adyn noeth,
Dan benllwydni, byw'n llednoeth;
Syndawd, rhyw ALECSANDER
Mawr fel hyn; Ow! mor aflêr!!
Ac yn lle nodwisg o gynlluniadau,
Eurwisg, sidanwisg ac ysnodenau;
Urddedig arwyddiadau——coneddus;
Dyma 'nhad BRUTUS â dim ond bratiau.
Nid oedd byddinoedd ei ddoniau——helaeth,
Nemor wasanaeth mewn ymrysonau;
Ond erydr a phladuriau,——oedd destyn
Ei ddawn; ac wed'yn i ddwyn y cydau!
Henaint ac ieuaint teg wedd,
O ganol *Llwythau Gwynedd*;
Rhai'n hanu o Frenhinoedd;
Am gardawd o flawd rho'nt floedd.
Rhianedd, rhai o honynt——lun boddiawl;
Delw ein BUDDUG arnynt;
Ac ELEN (deg, addien gynt)
LUEDDOG; a hil iddynt.
Rhosynau, blodau o blant——yn edrych
Yn odrist, ar ddiflant;
Eu rhinweddau gorau, gant,
A hwy'n ieuainc, hen wywant.
Gwel lwydfoch ag ôl adfyd;——ac arwydd
Mai curio mae'r yspryd:
Gwanychu, dygngnoi iechyd;
A dwyn gwedd y dyn i gyd.
Prinder a phob rhyw wendid,——a'u malant
Rhwng ymylau gofid;
Gorthrymder, llymder a llid,
Ac anhunedd cynhenid.
Hwy wyneblwydant yn eu blodau:
Gnawd i'r anwydog wneyd oernadau;
Gwel Elusen, ac a glyw leisiau,
Eu hoch'neidion a'u tuchaniadau:
Er achub ei gwrthrychau,——göebrwydd
Y gyr ei dedwydd, anwyl gardodau.
Arddengys ei bys bob eisiau;——estyn
Ei llaw, i'r adyn, ei holl wir reidiau.

Ei threfniadau, wrth reolau;
Yn ei cheisiau, iawn achosion;
Cyfraniadau, wrth fesurau,
O'i delidau, i dylodion.
Saif hyd wledydd ei hen sefydliadau;
Manteision di brinion, hyd wybrenau:
Ac nid yw pob gwiwras GYMDEITHASAU,
O'r FAM a'r FANON hon ond canghenau:
Golygir y prif Golegau——mal hen
Erddi Elusen, o iraidd lysiau.
Mae'n addas im' unwedd son,
Athrawon gwiw a thrywel;
Mae PINDAR a meib HANDEL,——wrth natur,
Gwerth NEWTON a HERSCHEL;
Mae OLEN a GALEN, gwel,
Yn y drysau'n dra isel.
Rhai o ddefnydd rhyw DDYFNWAL;—ein TYDAIN,
A'n TEWDWR dihafal:
Llüyddwyr, rhyfelwyr fal
CARADOG a'r cawr IDWAL.
Yr un o fil, o'r rhain f'o
Yn ei choleg yn chwilio,
Acw â yn falch cyn ei fedd,
I wasanaeth y Senedd:
Ar ei thraul, mawr a thrylen,
Megys gwr Llŷs a gwr Llen;
Y sy'n awr o'i oes yn ôl,
Athro fydd, doeth ryfeddol.
Dyfynydd, Beirniedydd noeth;
Chwalddart Treithiau ucheldoeth;
Oni bo'i ddoethineb ef
Uwch ben SULIEN a SELEF:
Gwel ffaeledd GIL a FWLER;
I wŷr mal hwynt rhoi aml hér.
Bydd miloedd, oesoedd isod,
Yn tynu at ei iawn nôd.
Ys iawnddoeth Elusenddysg——i'w choleg;
Uchelion wŷr mawrddysg;
A thra ynddynt Athronddysg,
G'RONW *Mon* gair yn eu mysg.
Pobl druon, lwydion, ddi oludoedd;
Eithr ydynt mewn ffydd a gweithredoedd,

Yn oludawg, gyfoethawg fythoedd;
Cyn hir, eneinir hwy'n Frenhinoedd;
Tro nesaf, ca'nt Deyrnasoedd——i'w mwynhau;
Heb naws o eisiau:—byw'n oesoesoedd.
Lot a roddawdd lety, o'r eiddo,
I Engyl nef; haddef yw iddo:
Mwy'r fraint a'r haeddiaint i a'i rhoddo,
I'w Brenhinoedd, heb arian, heno.
Cardotyn, bid cariad ato;——weithon,
Mynodd y breision y'm yn ddibrisio:
Cardotyn fydd, cred eto,——yn nheyrnas
Duw, a deg Dinas odidog dano!!!
Rhoi bwyd sy' well no'r bydoedd,——i fagu
Pendefigion nefoedd:
Groesawi gwyr sy' ar goedd,
Fry'n eu henwau'n Frenhinoedd:—
Darbodaeth awdur bydoedd,
Wrth ei Air a'i gyfraith oedd:
Ordinhâd, ni roed o nef,
Fwy diddadl i fyd addef.
Pennod heb raid esponiaw;
Amlwg ar bob llwg a llaw.
Hen Feibl, a hwn o'i faboed,
Sydd dros yr achos, erioed.
Yr *Iubili* ar ei blaid;
A Degwm, dâl bendigaid;
Tâl ydoedd i'r tylodion;
A thâl at wasanaeth Ion.
Ys dyunwyd ei hachaws daionus,
A'r dwyfawl, gynaddawl gogoneddus;
Am hyn rhaid addef mai anrhydeddus,
Yw gwneuthur Elusen i'r anghenus:
Hynod mor anghydmarus——cymdeithion,
Duw mawr a gweddwon llwydion, trallodus!!!
Ni ddychon y ddau achos,
O barth anwyl berthynas,
Wahanu byth; ni bu os;
Pâr ydynt mewn priodas.
Israel a ga'dd brif addysg;
Ysgrifen Moesen i'w mysg:
Duwiolion pob ardaloedd;
Eu bri, a'u crefydd bur oedd:

SIOB, wr gwiw a syberw gêd,——a chwiliai
Gŵynion na wyddai, a gwnai nodded.
Iesu, pan ymddangosodd,——wir athro;
Ei hethryb cyfnerthodd:
Efengyl ni chyfyngodd,
Ar hon, mewn un rhan na modd.
Nid lloffion, nid cyrion cae;
Maes y rhan a mesur hwy:
Nid wrth Len MOESEN y mae;
Cariad Samariad sy' mwy.
Iawn y dysg in'; Dos a gwerth——a feddych;
Dod wirfoddol aberth,
I'r tylawd un gnawd, gwan nerth,——newynog,
Anwydog, ofnog, hen, digyfnerth.
Ac o cheri Iesu Grist fel Cristion,
Amlyga dy gariad i'r tlawd gwirion:
Edrych am anwyl gadw ei orch'mynion;
O gwnei ryw giniaw, gwna i rai gweinion;
Ac nid rhai goludog, cyfoethogion:
Nid cyfarch a gwneyd cofion;—ond gweithred;
Rhoi tirion nodded i'r truain weddwon.
Ac wrth weithredu'n ddi goll,
Na udgana; dyma'r dull;
Boed na wypo bŷd, nepell;
Ië, naill law a wnel llall.
Yn y dirgel, gwel Duw'r gwaith,—lle byddo:
A mawr ei foddio mae'r ufuddwaith.
Cardodau y credadyn,
A'i arlwy hael, ar ol hyn,
I'w ddylyn a ddaw ailwaith.
Nid Iaspis, aur a grisial;
Ni bu ariant na Beryl,
A ro'er i'r tlawd, dydd brawd dâl,
Ei ddangaws i ŵydd Engyl.
Crist pan ddêl, arddel, mewn urddas,—y gwaith,
Ar goedd y tair teyrnas:
Ac am weini cymwynas,
Bydd mawr wobrwy, drwy rad ras.
Tlodion y'nt deulu da Naf,
Llios o'i frodyr lleiaf:
A weinydde un nodded,
I'r rhain a ga' orhoen gêd:

Yn y ne', dyle dilyth;
Mammon yn gyfeillion fŷth.
Cant ogoniant digyñen,
Teyrnas, gwych balas, uwch ben;
Y'ngwawl anfeidrawl nef wen,——coronau,
Gemau a thlysau, o waith Elusen.
Y rhai yn awr a heuant——ei maesydd,
Dim eisiau ni welant;
Os i'r bedd, ar ddiwedd ânt,
I fedi adgyfodant:
Myned i fyd y mwyniant;
Y'mŷd y nef medi wnant.
Ond garw, Ow! mor welw awr marwolaeth,
Ydyw y sénwr di wasanaeth,
A roes ei ariant ar usuriaeth;
A gado'r tlawd i gydiaeth——mewn trychni,
A dír galedi ei dreigladaeth.
Yn ei liain main, mynai
Fyw'n foethwych, dan fynych fai:
Llidiodd wrth bob llwydaidd ddyn,
Yn ei ddrysau'n ddi resyn;
I ddwyn dim oedd yn ei dai,
Ni thyciai gair na thocyn:
Rhoi i'w gwn, ar ei giniaw;
Ond dal y trist ddyn tlawd draw.
Ymhyllai, dwrdiai bob dydd;
Cernodiai eu cornwydydd:
Dydd y farn gadarn, ar g'oedd;
Eithradwy y gweithredoedd:
Duw a rydd ei dir a'i waith,
A'i hen eiddo yn oddaith:
A bydd yr hen gybydd gau,
Yn eu canol yn cynau:
Ei dda, am fyth, i ddim fydd,
Ond i'w enaid yn danwydd.
Nis gwnaed gwisg i'w enaid gau,
Na'i gorph llwm, ond gwayw'r fflamau.
Ni cha' yntef yn grefwr,
Byth yn ei safn ddafn o ddw'r,
I oeri tafod eirias:
Dloted fydd y cybydd cas.

Crist ni fyn ei ddylyn, na'i addoli,
O fydol annyn f'o di haelioni:
Gwel adyn dan galedi,——a'i dda maith
I'w dyn goffr; ymaith âi dan gyffromi.
Blodeuog bobl *Iudea*,
Oblegid erlid, eu da
Cyffredin, coffhair, ydoedd;
Oll eiddynt, rhyngddynt yr oedd.
Annhrefn y swydd hylwydd hon,
Ataliai'r apostolion:
A'u gofal er cynal, caid,
Grwagedd gweddwon y *Groegiaid*.
Casglu a threfnu, wrth raid,——eglwysig
Elusen i'r gweiniaid;
Tyst hoff in' gynt, STEPHAN gaid,
Deg gynor Diaconiaid.
Pa sut, eilwaith, mae'r apostolion,
Ag eirch eu miniawg orchymynion?
Yn ol y rheol bur hon,——hyd heddyw,
Cyfartal ydyw coflo'r tlodion.
I'w plith rho'i PAUL athrawus
Drag'wyddol reol ddi rus.
Cardotai'r cywir DITUS;——Trysorydd
Oedd, a chasgliedydd i'w hachos clodus:
Bu'r mâd Ganwriad, yn wir,
Was cywir; a ZACCHEUS.
Dacw'r anwylyd CORNELIUS——drugarog;
A'i feddwl enwog, ufudd, haelionus:
Swniodd ei Eluseni,
Hyd nef, y'nglustiau'n Duw ni.
Os cair, funudyn, eu 'sgrifeniadau;
O! mal y soniant am Elusenau:
A thaerion yw'r llythyrau;——heb ffuant,
O unrhyw siomiant yn y rhesymau.
Ys Crist, yn drist, dan boen drom,
Fu o'i rad ras farw drosom;
Gwael na ro'em, o galon rydd,
Ein golud dros ein gilydd.
Gwiliwn ddrwg galon ddi ras,
Annuwiol ANNANIAS.——
Ei gwybodaeth helaeth oedd,
Acw yn *Asia*'r cynoesoedd:

I *Brydain*, o'r Dwyrain, daeth,
Ar ei thro, yr Athrawiaeth.
Ac yn ein *Prydain* wen, gain, ogoned,
Gwladychodd, hydreiddiodd a cha'dd drwydded:
O! drysor llawn, drws ar lled——o ddeutu!
Lle i wasgaru a llŷsagored!!!
Cyn cred, ddeheued oedd hon;
O'i thu 'roedd doeth Dderwyddon:
Ond, er dawed cred, cair hi
Trwy'r Gair yn trarhagori.
Cydsynio caed y Senedd,
I'w choroni hi mewn hedd:
A chai le yn uchel Lŷs
Brehinoedd boreu'n Hynys:
A'i baniar uwch Unbenaeth
Holl Lŷs yr Ynys fawr aeth.
Ein gorhaelion fawrion annifeiriawl;
MORDAF a NUDD, hen Gymry defnyddiawl,
A'n RHYDDERCH yn orhaeddawl—o'u coffhau:
Cu iawn yw henwau'r fath wŷr cynhwynawl.
Molianwyd, am haelioni,
Ein Tad Naf, a'n teidiau ni:
Dyngarwyr doniau gorhael;
Cofier hwynt, ac IFOR HAEL.
O! bydded i bawb addef,
Filoedd o'i hefelydd ef.
Mawr yw meib *Cymru*, a'i *Mon*;
Mwy na RHYDDERCH mewn rhoddion:
Lliosawg bob lle, eisoes,
Yw mawrion haelion ein hoes:
Dyma wyrda, had MORDAF;
Heidio o ne' mae had Naf.
Ys cryf fu SELYF a SIOB;
Mae'n awr wŷr mwy yn *Ewrob*.
Rhanu'n awr, yn aneirif,
Mae cynrain y *Brydain* brif;
Talent ar dalent yw'r dylif;——ffyrling,
Hadling ar hadling yr ehedlif.
Dyngar, Elusengar swydd;
Gwiwddrych boneddigeiddrwydd.
Yn yr *Ynys wen* arianog,
Hael, gywreiniawl a gorenwog,

Tai Elusen y'nt liosog:
Onid ydynt iawn odidog?
Didrai rhy' rywrai arian,——ddigonedd,
I gynal y cyfan:
Di gyrith fendith i'r fan
Lle deillio, o hyd allan.
Syndod, bob Elusendai;
Ba fath draul, ac heb fyth drai?
I'r rhain Ba seilfain, Be sydd?
Neud y mwnai'n domenydd!
Prif fwynglawdd cûdd, hawdd ca'dd hi;
Cyfnerthydd, neud cefn wrthi:
Gwythen oedd, gwaith iawn addef,
A'i phen anorphen yn nef.
Ar draul hon, rhodio ar led;
Ac arddelwi gorddyled:
A dreuliaw daearolion,
Ni leiha gornelau hon:
Ni ddderfydd nawdd ei harfoll;
Pyrsau Duw; Pa arswyd oll?
Prês fwnai *Paris Fynydd*,——aur *Periw*
Eu parhad a dderfydd:
Rhad hon, heb unon, beunydd,
Yn fwy fwy, o nef, a fydd.
Daioni a dywenydd,
Ail yr haul a'i oleu rhydd:
Y Duw da fu'n gwneyd y dydd,
A'r twr ser, yw'r Trysorydd:
Efe a lywia'n ddi lys,
Ei waith oll, wrth ei 'w'llys.
Mewn munud, man y mynawdd,
Y dw'r yn win a dro'i'n hawdd.
Trumau *Ewrob*, creig bro brid
*Eryri*, gwnai'n fyrierid:
A'r clai'n fwnai neu fânaur,
Ail i *Beriw* lwybrau aur.
Anian fawr a wna'n forwyn;
Ednod a physg dysg i'w dwyn.
Pïydd aur ac Epaod,
Ac oll a fu ac eill fod:
Y ddaear yw eiddo'r Ion;
Holl nwyfau a llu neifion:

Lloer a'i nwyfau, llu'r nefoedd;
Eiddo y cwbl, ddaw ac oedd.
Ei radau ymddiriedodd;
Dan eu rhif, Duw in' a'u rhodd:
Nid ein eiddo ni ydynt;
Ei eiddo Ef heddyw y'nt.
O'i drysawr gwerthfawr, ar g'oedd.
Torwn eisiau Teyrnasoedd.
Na chynilwch, anwylyd;
Tâl Duw gost y tlawd i gyd.
Ni bu annoeth Unbenau——ein Hynys;
Ni honwyd gwrthddeddfau:
Rhoed i'r hyn y perthyn, pan
*Prydain*, a'i darpariadau.
Telaid hawl y tlawd yw hon:
A threthir ei thir weithon,
E dretha'n Llywodraethydd
Bob cwys o'n Paradwys rydd.
Rhaith Duw Ior a'n Sior ni sydd——yn union
Un goelion a'u gilydd:
O blaid y tlawd, a ffawd ffydd,
Y troedia Sior y Trydydd.
Y Sior uchelwaed sy' Or'chwyliwr
Ei dylodion, a'u da Lywiawdwr:
Ymgeledd gorsedd y gwr——i'w faon,
Wna glod i goron ein gwladgarwr.
Ië 'i dylodion ei deulu ydynt;
Parawdd eu harddel, dirprwyodd erddynt:
Boneddion bawb o naddynt;——cyfreithwyr
Rho'i, a'n Seneddwyr yn weision iddynt.
Ein cynor Sior, ar ei Sedd,
Adfero Duw ei Fawredd
I'w iechyd, a'i fywyd f'o
Ddyddiau hedd, i'w ddyhuddo.
A'i had a f'o hyd y farn,
I'n ciwdawd yn ben cadarn.
A chorph y wlad yn wychr, fflwch,—dan dirion,
Loyw, iesin goron Elusengarwch.
O'r degfed bu gêd pob gwan,
Ac anghenog, y' *Nghanaan*:
Ond gwyddys, i'n Hynys hon,
Mai nid degwm, ond digon.

Rho'ir digon i weinion wŷr;
(Mae'r degwm i'r diogwyr?)
Rhyw deyrnged ddirefedi;
Cyhyd a'r rhaid codir hi.
Treth ddinac; diwrthwyneb
Aerdreth, o flaen andreth neb.
Ai hwy ('n fwyn, un ofynai,)
Yw arglwyddi'r tir a'r tai?
O! 'nawr, dedwyddach i ni,
A chwe rhwyddach yw rhoddi:
Hau'n helaeth, helaeth â hi;
Gwyn fyd yn nef gawn fedi:
Rhoddi wna drysori sail;
A chodi goruwch adail.
Rhyw ddyn a wasgarodd dda,
Gai 'chwaneg, o echwyna!
Pa fraint sy' cymaint, os caf
Ro'i echwyn i'r Goruchaf!!!
Ac heb law hyny, y cwbl a henwyd;
Pa faint o ariaint eto a yrwyd,
O *Frydain*, pan ddifrodwyd——Taleithiau?
Am Elusenau hon aml y soniwyd.
Pan fu goruthrau, taranau trinoedd,
Yn taro'n isel iawn y teyrnasoedd
A draws-feddiannid gan drais-fyddinoedd:
Mawr, Oh! 'r dolur gai amryw ardaloedd!
Draen du i lawer, dirion deuluoedd;
Troi'n ffoaduriaid, drwy anffawd yroedd,
O'u cyfaneddau acw i fynyddoedd:
Aberthai *Brydain* lydain oludoedd;
Blaendorai eu blinderoedd:——bendithion
Y truenusion ddo'nt arni oesoedd.
Caethiwed, llaw galed lle y gwelai;
Gerwin lymder, croch oerder carchardai;
Yn dosturus, arwylus eiriolai,
Ar ran y dinerth, er na adwaenai:
Casglodd, anfonodd fwnai——i'w gwared;
Hoyw lawagored, a hael y gyrai.
Ac os cwn, neu faeddod cas, canfyddai,
Yn darnio y ddafad wirion, ddifai;
Gan ei brydwaed, ei gwyneb a wridiai:
Ein hen *Brydain* i'w hwynebau rhedai;

A chwbl oll achubai:——gwobrwyon
Gan îsraddolion, gwn nas arddelwai.
*Prydain* sydd, parhaed yn son,
Yn meddu dawn a moddion;
A'i hofn, a'i pharch, fwy no phob
Lle arall yn holl *Ewrob.*
Ei chyfoeth mawr, a'i chofion,
Yn ddi ri' sydd yr oes hon:
Deall y bŷd oll o'i ben;
Gwel dlysau gwlad Elusen.
Yr oes hon, er ys enyd,
Cair hi'n berl coronau bŷd.
Er ei gwawrddydd o rydd ras;
Dwthwn y FEIBL GYMDEITHAS;
Elusen Elusenau!!!
Beth am hon byth i'w mwyhau?
(O! rhyfedd, yr IEHOFAH;
Rhoi 'i hun i ddyn yn rhan dda!
Hynod ddarbod; e dderbyn
Yntau o gardodau dŷn!!!
Hynod iawn y daioni;
Yr Ior nef, rhoi 'i Air i ni!
Mwy rhyfedd, Duw mawr hefyd
A'i Lyfr bach ar blwyfau'r bŷd!!!)
Od aeth y fendith hyd eithaf *India,*
O'i da ewyllys hi a'u diwalla:
Llwybr i'w chyniwair lle bu Arch NOAH;
Aed o'r *Ararat* i dir *Aurora*;
O'r Ynys moried i'r hen *Samaria*;
Dychwel hi'n dawel i hen *Iudea*;
Ys llafur hon nis llwfrha;——adnebydd
Y cu leferydd ochrau *Calfaria*:
Cyn hir, pregethir ar ben *Golgotha,*
Neu, mewn mawr awydd, yn mhen *Moríah,*
Yr *Olewydd,* a *Mynydd Amana*:
Daw'r amser da'r adfer Duw ryw odfa;
(Pwy?) Hen Eglwysydd penigol *Asia*:
Cenhadon can' eu hwda——o fyned;
Neud drws agored, nid rhyw segura.
Hwt, y Bwystfil, gau Brophwyd heb westfa;
Neb, neb o'u deiliaid na bo'n *Abdalah*:

**Cwymp Babel uchel dan bla,——yn ei hawr;**
**Wele oleuwawr! Wi! Haleluiah!!!**
**Ansawdd oer *Ynysoedd Ia*——cynesed;**
**Eich tir O! caned, a choed *Hercynia!***
**Oian, ho, hoian, ha ha;———crechwenir**
**Yn nef, ban gwelir gan feibion *Gwalia,***
**Dawn Dduw'n dwyn newyddion da—i'w hoff dir,**
***Hermon* a *Senir*, Amen, Hosannah!!!**
**Daw'r genedl adre' i *Canaan*;——daw ail**
**Adeiliaw coed *Liban*;**
**Daw mil, myrdd o demlau mân,—mewn purdeb,**
**O odreu *Horeb*, draw i *Haran*.**
**Ac hefyd, y bŷd cyfan,——a fyn hi,**
**Yn glau, goroni; ac ail greu anian!!!**
**Cyn hir, gwreiddir gwir addysg**
**Iesu mawr, a'i ras, y'mysg**
**Paganiaid y pegynau;**
**Lle bydd Eglwysydd, yn glau:**
**Crist'nogion ffrwythlon a phrif**
**Henuriaid yn aneirif.**
**Da dwg addoldai digoll,**
**O'r *Indus* i'r *Andes* oll;**
**O'r *Mynydd Gwyn* i'r *Minho*,**
***Caspin, Appenin*, y *Po*.**
**Tai mawl, o faint temlau f'o**
**O'r *Ganges* fawr i *Congo*.**
**Wele'r gwyllt addolwyr gau,**
**O!'r miloedd, ar ymylau**
***Ganges*; b'o hanes pau hon,**
**Fwy enwawg nog fu *Ainon*:**
**Heb warth mwy aberthu myrdd,**
**I fawr gerynt dwfr gorwyrdd.**
**Nid boddi enaid byddant;**
**Bŷd ddaw'n well; bedyddio wnant:**
**Un buch a'r Eunuch yr ânt;—i Grist mwy,**
**O fodd, hwy ufuddhant.**
**Urdduniant yr *Iorddonen***
**Fo'u deddf hwy, Fedyddfa hen.**
**Lle bu yn malu miloedd,**
**Olwyn y certh Eulun coedd;**
**Ni fydd draw, man fu ddi drefn,**
**Ar fyr, unrhyw fawr annhrefn.**

Na gaulun i'w ogelyd,
O begwn i begwn bŷd.
Cytûn fydd *Catai* hen, faith,
A *Chafres*, dan ei chyfraith.
Cenhadon acw yn hudaw
At Grist, y bŷd trist, boed draw.
Coflant o lwyddiant di lys,
Eluseni'r lâs Ynys.—
Y rhawg cofir rhoi cyfoeth,
Ac aur nef i *Negro* noeth.
Nid tywys *Indiaid* duon,—mwy'n orthrwm,
Yn wrthrych tor calon;
Ond, er lles i'n brodyr llon,
Rhoi addysg i'r gwŷr rhyddion.
Yn flin fal anifeiliaid,——yn gaethion,
Y gweithiai trueiniaid;
Eu llafur oedd bur ddi baid,
Goris tynbwys gwres tanbaid.
Ow dyn, bryfyn brau, aflach,
Yn dwyn ei bwn, adyn bach;
Rhag ei weled rhed yr haul,
Wres araul, yn brysurach.
Ar ladron dynion nid oes
Gywilydd wel'd eu gwaywloes.
Gwrthuni gwerthu einioes,
Trwy ben Elusen â'n loes.
Fyth na fid y fath an foes,
Ar *Ewrob*, a'i gwŷr eirioes,
A dwyn gwiw eneidiau'n gaeth,
Drwy ofnadwy drefnidiaeth;
A dynoliaeth dan wylo,
A gwedd wael yn gwaeddi Oh!
Fferdinand cyffroed yn awr;
A Lewis ar oleuwawr:
Na b'o yn hwy Unben hyll
*Gelli*, a'i ddaint yn gyllyll.
Dros bedeiroes, bid araith
Wilberforce, oleubraff iaith.
I'r bŷd yn brif Ysgrifen;
Hardd aurgylcher llawer llen.
Drwy holl *Ewrob* yn mhob man,
Llinellau, o hyn allan:

Geiriau ei bwngc gorwiw, bid
Arwyddair i wir Ryddid.
Un gair, yn ddysglair, neu ddau,
Fo'n arwydd ar Fanerau;
Ar ffyd, neu gerbyd pob gwr,
Ar sy'n eiddo'r Seneddwr.
Yn senedd *Hispaen* swnio;
A phregeth ddi fêth a f'o.
Llwybrau brad, lle bu'r Iau bres,
Ac artaith lladdfeydd CORTES:
Haelwyr da fal HOWARD, f'o
Lwyddiannus, filoedd yno.
Unawl, ac un hawl, cyn hir,
Caf *India* a'n cyfandir:
Ac nid erlid cnawd, arlwy
A dwyn y meib duon mwy.
Elusen yn gowenu,
O gariad ar *Negro* du.
Dan wlith hon, dynoliaeth dda,
Cyfiawnder caf i *India*.—
I'w thref, Yspytdy ac Athrofa——bydd,
Erbyn a'u gilydd yn nhir *Benguela*.
Dwyn i fod ddefod ddifai,——nefolaidd,
Eglwysi *Indiaidd* ac Elusendai.
I'r enwir a'r anwâr rai,——dysg urddas
Hen wersi GILDAS yn yr Ysgoldai.
Gwiblwythi'r coed-dir, *Catai*,—bro'r *Ganges*,
*Andes*, y *Gafres* yn dysgu Efrai.
Y fwyn Efengyl, heb fai,
Trwy wir grefft yr argraphdai;
Mewn Llyfr, a dim mwy na llai,——argraphir,
Cyn hir, yn *Senir* ac yn 'r hen *Sinai:*
O! gwyn fyd: Oh gwae na f'ai——heb gerflun,
Na delw neu Eulun hyd lánau *Ulai*.
Ymdrwsio mae dros y myr,
Acw i faethu cyfieithwyr.
Mwy boed nawdd, meib duon wyr,—plant gwylltion
Fu'n byw yn noethion fo'n Benieithwyr.
Meib i GARREY 'mhob gorawr,
Canwyf mwy, Cynauaf mawr.
Ynfydion dan ofidiau,——gwirioniaid
*Gorynys y Dehau;*

O chaiff aur a chyffuriau,
Nis mêth hon a'u hesmwythau.
Dwyn nwydwyllt wayweneidiau——cythreulig,
Rai gwallgof loerig i well cyflyrau.
O gariad, gwneyd ei gorau,——na bo'n gaeth
Neb, yn ysglyfaeth i'w boenus glwyfau.
Y gorddeirch ydynt ei gwir ddyrchedig;
Hwynt fyn nodi ei chyntafanedig:
Gwêna a gwrida'n garedig——arnynt;
A denfyn iddynt yn ofoneddig.
Diwalla, dyhudda hon
Alltudion trallodedig.
*Prydain* fu'n peri adwyth
I deulu pell, dâl y pwyth.
Elw trais yn ol eto rhydd
I'r byd, ar ei bedwerydd,
Drwy estyn dros y dón draw——bob moddion,
O'i gwiwfawr roddion, i'w gyfarwyddaw.
Yma i'r Senedd, wiw ymrysonau,
Y cair rhyddfreinwyr cywir ddwyfronau;
Dyngarwyr, gwladgarwyr o glod gorau;
Gwerin bleidwyr, dan goron a blodau;
Dros y tlawd, didlawd eu dadlau:——gwarant
In' y try llwyddiant eu haur-allweddau.
Ac os oedd dda gosod gwiw Swyddgeiswyr,
Yn newydd, orchwylus, Gynddrychiolwyr;
Ni a'u dysgwyliwn, onid oes gwaelwyr,
Ein Gweinidogion gwiw a'n Diwygwyr:
Nid i ddifa'n dyoddefwyr——tlodion,
Na dal yn gaethion dwylo ein gweithwyr.
Symudwch y dreth sy'n eu dyfetha;
Un glo'n aberoedd, un gwlan a bara;
Ac un halen, rho'wch ar y cwn hela,
Neu ar deulu Endor, a dail *India:*
Neu wnewch yn unionach no hyn yna.
*Alban, Lloegr,* clybwn oll, â—chwerw iawn floedd;
Llais ein cenedloedd oll sy'n cynadla.
Treth ydd ŷd, nid rhith o dda,—dilëwch
O lwg: O! gwyliwch lewygu *Gwalia.*
Arlwy na b'o mwy yn mhob man,—rhwng holl
Ryngylliaid pedryfan;

Gridyllio'r *gair du* allan,
*Lloegr goch* yn llewygu'r gwan.
Y ddwyradd Senedd wiwrif,——iawn syniont
Hyn o sen o ddifrif.
Tai disgraid, at Ydysgrif,
A fo'n *Peryfon* a'n PRIF.
Nid bod flwyddyn a blwyddyn yn bloddest;
A cheisio gwleddoedd o'u chwys, a gloddest;
Ond arwain barn mewn dirwest,——o bobtu;
Yna llewyrchu wna llai o orchest.
Na b'o unpeth yn benpwn;
Llwyth rhy fawr, rhag llethu'r Fen:
Gyrwr teg, ar riwiau'r tyn,
Ni yr ei wef yn rhy wan.
Ys cymwys nodais y camsyniadau;
Deued adgodiad, a diwygiadau;
Bywyd tylodion heb ataliadau:
Ac na b'o ochain gan wayw ei beichiau;
Uchel dwyll, a chaled iau,——gan druain
Mwy; ac y'*Mhrydain* dim camhaeriadau.
Gwir Athrofa gwrthryfel
Yw'r frysgyll daer,fraisg lle dêl.
Ni ddaw i'n blingaw ni blaid,
Yn *Mrydain*, o NIMRODIAID:
Yn ysgol hedd nis gwel hi
Un GWRTHEYRN, na gwarth arni.
Ond hwy a ledant i'w hewaint tlodion,
Eu calonau a'u dorau, yn dirion:
Ystyriant eu heisiau taerion;——cofiant
Mor dda a fyddant, mewn myrdd o foddion:
Y tir amaethant, gwnant bob trymweithiau;
Ein tir dyffynant drwy waed a phoenau.
Cyrn ein Teyrnas, gwaisg urddas, gosgorddau,
Yn gwrthdrin galon greulon, hagr aeliau;
Morwyr, moraerwyr, grym i'w mawreiau,
I drosi Llynges, hyd wersyll angau:
Dwyn pwys Celfyddyd ein pau;—ac hebddynt
I ba blwy'r hélynt BOBL Y RHEOLAU?
Ein boneddion, byw'n haeddawl—y byddont,
Er budd cyffredinawl;
Ac er mwyn cyweirio'u mawl
Yn IFORIAID anfarwawl.— —

Yn ymyl barn, aml y bu
Drudaniaeth yn dirdynu.
Gwaethu cyflog y gweithiwr;
Arno bu curo, bob cwr:
Mae y gwr yn ymguraw;
A'i dylwyth yn ŵyth neu naw.
Dan oer hin yn dwyn y rhaw,—mewn trymwaith;
Bu ganwaith heb giniaw.
Aml y mae yn teimlo mîn
Yr awel ar ei ewin:
A llwm yw ei gotwm, gwel;
Durfing i'w waed yw oerfel.
Noswylio yn iselaidd,
A'i fynwes yn brês oer, braidd.
Ba helynt cael ei blant cu,
Oll, agos a llewygu?
Dwyn ei geiniog dan gwynaw;
Rhoi angen un rhwng y naw!
Edrych yn y drŷch hwn dro,
Gyr galon graig i wylo.
Pob cell a llogell egyr;
A chloiau dorau a dyr.
Af yn awr, os erys fy nhrysorau,
Yn y tryfesur toraf eu heisiau:
Ys y'nt weithon yn noethion dan aethau;
Ydd hil ddaionus a ddel o'u lwynau,
Ond odid, dan wendidau,——nad f'wyrion
A berth ddanteithion, a borthant hwythau.
Pwy ŵyr pa ddamchwa a ddymchwel—y'mwrdd,
Am urddau goruchel:
Chwith, ni wy's dim chwaith, nes dêl
Mawr drysawr Duw i'r isel.
Llawer man lleiheir mwnai;
Rhyw ail drefn i'r awel droi:
Daoedd a thiroedd a thai,
Iechyd a pharch wedi ffoi.
Ni threngaf, er rhuthr angen,——dan ofal
Duw nef, ac nid amgen:
Caf fwynhau, caf fyw yn hen,
Ryw ail oes ar Elusen.
Ond gweithiaf yn ddyfal a gofalus;
Enillaf arian, yn ddyn llafurus;

Fy alaf arbedaf yn ddarbodus;
Nid i'w claddu yn do cywilyddus
I rydu; na'u treulio yn afradus;
Ond rhanu i'r truenus,——a'u lloni,
O'm holl ddaioni, a myw llwyddianus:
Rhoi inghynydd i'r anghenog;
Arian-lle da i roi'n llôg:
Meichniydd, dyledydd di lyth;
Llaw gaf fyth holl-gyfoethog.
Rhyw hogiau, a rhai egwan,——yw'r pyrsau;
Ië'r god orau i gadw arian.
Ys oedd minteioedd tewion,——i'r drysau,
Ar draws, o dylodion;
Bendithir, cyn hir, gan Ion,
Tai'r gwragedd trugarogion.
Credu ateb cardotyn——gwan, distadl,
Gan dystion sy'n canlyn;
Nabod iaith wyneb y dŷn,
Tecach no darllen tocyn.
Digon o dystion distaw——yw'r *corpws,*
A'r carpiau am danaw:
Tru yw dull hwn, troed a llaw,
'Rwy'n gweled, bron ag wylaw.
Daw atoch hen gardotyn,——rhai i'engaidd;
Rhyw angel yn canlyn;
Gwel yn deg, drwy galon dŷn,
Ba groesaw ga' feib gresyn.—
Rhai beilchion, breisgion ein bro,
*Caerbaddon* ceir i'w boddio;
Ac wed'yn, gwenyn yn gwau,
Carant, cofleidiant flodau:—
*Sais* ei bwngc;—â *Swiss* i'w bau;
Elusen lle gwel eisiau.
Melysu mae Elusen,
Y bustl, a'r huddugl o'i ben:
Gyr chwerwder o garchardai;
Newyn y lleidr a wna'n llai.
Nid bai a noda â'i bys;
Ond angen, hi a'i dengys.
Gwreichionen, haden yw hi
O ras Ion a'i resyni.

Aed ogylch; a diwygio,
Diwallu bŷd oll y b'o:
Teyrnasoedd truenusion,
Draws a hyd, a drwsio hon:
Gwellhau pob llwythau i'w plith:
Hyd *Banda* aed ei bendith.
Anrhydedd y Gogledd gwel'd
Ei phrif-ffyrdd drwy'r *Dophraffeld.*
O'r *Appenin* i'r *Pinwydd;*
O dywyn i benrhyn bydd:
Pob pant, bryn, nant, pob rhyw nen,
Oll lle dringo lleidr angen:
Draw rhaiadru drwy'r Hydred;
Mwynder hon, fal *Moendor,* rhed.
O'i golud, byth, gwlaw di baid,
Mae digon i'r *Madogiaid.*
Llwyddianus ca' Elusen,
Wynfyd ar y bŷd o'i ben.
Oi, Oi fydd yr Oroian;
Natur, o gylch, un tro gân:
Brau Ddwsmel beraidd, esmwyth;
Rhyw Bibell aur i bob llwyth!!!
Drwy bau deg cred, a'r bŷd crwn,—ei llwybrau,
Ar heirdd orlenau'r hir ddarluniwn;
Diwedd ei Hawdl, y dydd hwn,—mewn Saphir,
Ag aur o *Ophir,* a argraphwn.

TALIESIN,
SEF
DEWI WYN O EIFION.

*Y Gaerwen,*
*Medi y 7ed,* 1819.

☞ MAE yn deg i'r GWYNEDDIGION, os mynant hwy, argraphu yr Awdl uchod lythyren yn llythyren fel yr oedd yn Eisteddfod Dinbych, y 6ed o Hydref diweddaf; sef, os argraphant Awdl y DRYW felly hefyd, heb oddef dim newidiad yn y naill mwy na'r llall, er gwell nac er gwaeth; yn amgen, nid oes iddynt a ymyront â'r eiddof fi.

Yr wyf yn ystyried y buasai'n dra buddiol i'r darllenwyr fod esponiadau byrion ar gannoedd o bethau yn yr Awdl hon; ond gan y chwyddasai hyny'r llyfryn i gymaint arall o faintioli; ni wnaf ond cyfeirio'r ymofyngar at y llyfrau Cymraeg diweddaraf, megys *Daearyddiaeth R. Roberts,* o Gaergybi, a'r amrywiol hanesion perthynol i'r GYMDEITHAS FEIBLAIDD, a CHENHADAWL, &c. D. O.

# AWDL

# *CYFARCH Y GWEITHWYR.*

WEL iechyd, iechyd ichwi—y gweithwyr;
Pob gwythen ar egni;
Milain hwrdd—y'mlaen a hi,
Mae'n rhywyr, y'min rhewi.

Ho, mae cant am y cyntaf;——am y pen
Y mae pawb, mi welaf;
Gwa'wdd yn ol, a gwaeddi wnaf
Mwy gwyrol am y goraf.

Daw'r truain i'ch draed rhawiau;—da paloch;
Daw polion i minau:
Na fo'n bod, yn *Eifion* bau,
Eisieu mawrion Swmerau.

Nid hel brwyn ond hwylbrenau—y byddant,
Er budd i Lyngesau:
Gwae y lleidr—bŷd yn gwellhau,
Grŷg a brwyn yn grogbrenau.

Gwŷr nerthol a wnaen' gryn wyrthiau;—palent
Nes pylu'r holl arfau;
Enill arian holl *Ewrob*,
A phlanu pob affliw o'n pau.

Ban chwysoch, ben a choesau,——da palwch;
Daw pelydr melinau:
A thyf o bridd eithaf brau,
Er eich mwyn arch i minau.

Rhyw wych grydau, eirch credir,
O'u ceingciau'n hawdd, cawn cyn hir;
Newid ar ddeunydd noeau;
A thânwydd o'r bregwydd brau.

Ac wedi rhoi'r coed ar werth,
Gofynir rhyw gyfanwerth:
Gwel Rhifydd gymynddydd mawr,
Wrth y droedfedd, werth drudfawr.
Rhagor mawr i'r gwr a'u medd,
Ar y gwrŷg ddygai'r gwragedd!!!

Creu a wnewch i'n Caerwen ni,
Cysgod rhag dyrnod oerni;
Cysgodion lle cwsg adar,
Tŷ'r edn gwyllt, a'r eidion gwâr:
Ac îs gwiwdeg gysgawdwydd,
Eidionau'n porfau a fydd.
Cau cloddiau, amlhau, mal hyn,
Y gwrysgoedd i'w goresgyn;
Y fath ddrain a feithrinir,
Fu gynt yn fwganod tir:
Synai hen oesau yn ol
Fyn'd eithin mor fendithiol.
Defaid, gwartheg ac egin,
Cant les rhag gwres ac oer hin:
Wyn a lloiau yn lliaws,
Amgen hwynt, magu yn haws.
Amlhau buchesau a chaws;
Mwy ddengwaith yn ymddangaws:
A ffyniant, prifiant y praidd,
Lle porant y mill peraidd.
Ys degwm sy' dauogaidd,
Yn gwywo'r ŷd yn y gwraidd,
Cnau'r ddaear liwgar ar led,
Ei chnwd rhydd,—a chant drwydded.

Y dwfr fu'n codi efrau——i gerdded
I dir rhy galed, hyd rigolau;
Yn ddof y rhed, dan ddyfrhau---y sychwraidd;
Dwg wair gwlyddaidd hyd y gweirgloddiau.
Ys byrfrwyn, llafrwyn yn llu,
Neu gyrs oedd yn gorseddu;
Pabwyr gleis, pob oerweig wlydd,
Hesg lwyni, a siglenydd.——
Pe b'ai'r grŷg pybyr eu gwraidd;
Byr galedwellt briglwydaidd,

O unrhyw do yn rhy dyn,
Garw wasgawd yn goresgyn;
Dyfrio'n dda, ac yna cair
Rhyw well gwair no'r droell goryn.
Ys PEDR, oedd hyfedr, wnai dda,—di elfydd,
I oerion Rosydd yr hen *Rwsia;*
Pwy draw a fu, er PEDR FAWR,—yn ail MAUGHAN?
Ni wyr hanesion yr un eisawr.
Amaethad yma weithon,
Ddyeithr beth, a ddaeth o'r bôn:
Mawr fendith mwy ar fawndir,
Cnwd da cynyrcha cyn hir.
Llygra cawn; yn lle gwrŷg hyll,
Dwyn cywarch lon'd ein cewyll;
Certwyni'n cario'u tunell:——
Ni raid myn'd i rodio 'mhell.
Ni ymholwn am hwyliau,
Draws y bŷd, o *Rwsia* bau:
A throi a wnawn, uthr i ni,
I drin llin, a'i droi'n lléni.
Darbodus, haelionus law,
Da reolaeth i dreuliaw;
Rhwydd yw pawb yn rhoddi punt,
Mae'n debyg, er mwyn dwybunt:
Ar un pen yn rhanu punt,
Mewn deuben mynu dwybunt:
Pwyntio'n well, rhoi punt a wnaeth
Enill Talent lled helaeth.
Dyma gynllun cyfuniawn,
SELEF yr oes, law fawr iawn.
Irdwf ar hyd y fro hon,
Ail i binwydd *Lebanon.*
Mal *Liban* a *Basan* bydd,
Drych wiwdrefn, derw a chedrwydd;
Ein *Eifionydd* newydd ni,——a'i lloerawg
Ymylau'n goediawg, mal *Engedi!!!*
Ein *Rhos* fawr yn rhesi fil,
Heb ddim elfydd: bydd milfil
O goed, aml mângoed, mil myrdd—addfeinion,
Ac eraill praffiion gar llaw prif-ffyrdd.
Pen y gamp i hon a gwyd,——lle weithian
Y llunir gwinllan well no'r *Ganllwyd.*

"Planu ac nid prynu pren,
Ymddiried, mwy, i dderwen."*
Nythed brain, a thoed y brig,
(Dail a mês) deulu musig;
Goglais â'u meinlais mwynlef,
Y'nghlyw'n ail angylion nef:
Pyngcio, bob edn, yn llednais,
Ryw bwyslais, arab oslef.
Gwaed y bardd, fe gwyd ei ben,
Cyffroant, caiff yr awen.——
O! aed i'r moelydd i doi'r ymylau,
I odreu'n bronydd i drin ei brenau;
Coroni pob cwr o'n pau;——gwŷdd tewfrig
A wna'n foneddig ein hen fynyddau.
Gwinllanoedd, o gynlluniau—*Gardd Eden*,
Ar dir y *Gaerwen*, o'r derw gorau.
Cnwd ail fu cyn y diluw,
Lle gynt oedd oll o gnwd Duw—
Os planwyd coed ysplenydd,
Gan law Duw'n gynil liw dydd,
(Ac ys Addaf, doethaf dŷn,
Fu gwed'yn yn Fegidydd,)
Ei was sy'n awr, îs y ne',
Dŷn a wyr yn dynwared.
I ni a'n plant daw'r fantais;
Tra b'o y byd, tyr bob ais.†
Pulpudau 'mhob plwy',—peidiwn
A chadw swn,—iechyd i Sais:
Dyeithr Lyw fendithio'r wlad,
Ymddifad, am ei ddyfais.
O'r coed Gopher cyd gaffom,
Mal No gwneyd arch, drwy barch b'om;
Arch o'n mês ar erchwyn môr,
Acw i'w dynged cwyd angor.
Uwch y mes hyn, chwe mis hir,
Meibion da *Gwalia* gwelir;—
Cenhadon acw'n ehedeg,
Dwyn gair Duw yn gywir deg.
Ai trwy hyn, eto, y rhaid
Diwygio y *Madogiaid*?

* Gwaith yr Awdwr, o Awdl Amaethad. † Rhif unigol o eisiau.

Hanbo i chwi henbych well,
Mae llin CAM oll yn cymell.
Troi'r hirnos o *Batmos* bell;
Dwyn byd oddi dân badell. *Gwel*, Esay, XVIII.
Pan delo pob hen dylwyth,
Diwygio llin y Deg Llwyth;
Gwna di ludd Genhadau, lwyth,
ISHMAEL ac ESAU'n esmwyth!!!
Gan hyny, os felly fydd,
Rhaid trin mes,—rhaid rhoi'n maesydd.
Prinion iawn yw prenau'n wir,
Prinion a drud y prynir;
P'ond di brin pan' y ty' braff,
Frenhinbren y fro'n henbraff:
Ergyd trwm ar goed tramor;
Dychryn maent hyd ochrau'n môr:
Prynu b'ont, prenau o bell,
Yn danwydd, wrth y dunell.
Y derw i werth a dyr wŷdd,
Gyr helyg o'r heolydd;
I *Halifax* hel i ffordd
Y gweig ysgaw â gosgordd.
(Cymyredd) ca' *Amerig*
Ddoeth, gall, oddeithio ei gwig.
Ty'n cedrwydd at ein Cadres,
Rhyw gan' myrdd o'r egin mes.
Oni ddaw, yn oddïoed,
Naw cant i gymynu coed?
Gwel y derw a gludeiriant;
Tua'r môr yn llwyth trwm ânt!
Pedrol Fen;—Pa dreulio fydd——dyfeisiau
Amryw o Fenau y'mro *Eifionydd*?
Bro *Eifionydd*, brif hanes,
Toir y môr a'n tir o'i mes;
Meib gwrawl y'mhob goror,
A'u gwaliau mes gwylio môr:
Mwg a niwl o'u magnelau,
I ddychryn pob gelyn gau.
Camwri nis cymerwn,
Ond trinwn ein taranau
Tori crib hir *Twrc* a'r Pab,
Bo'n ar[illegible] ein Baneraui

Mawr gerydd ar bob môr-gawri——diriaid,
*Amerig* wylliaid, lladron môr *Gelli*;
Crynu a wnant; corniwn ni——wŷr *Flanders*:
Gwae aerwyr *Algiers*, ar gyrau'r weilgi.
Ac ar y wendón, er y gerwindeb,
Heriaw ac anturiaw, gwneyd Diareb:
Nid rhaid i ni fyn'd dan draed neb—dynion,
Cefnu yn weinion, nac ofn un wyneb.
A'r gair mawr a gario MAUGHAN;
Aed a'r gair da, a'r goron.
Y tw'n oes y to nesaf,
A'r amcan, cyfan y caf:
Tystio mai da iddo oedd
Gau degau o goed wigoedd.
Rhyw fro falch, ar fyr, a fydd;
Pau'r llwyni a'r perllenydd;
Ei chlod fyth fwy no *Chlwyd* fawr:
Hefelydd hi i *Faelawr*.
Grymusder, ac aur *Mostyn*,
Ni fyrha, â'n fwy er hyn!!!
Llwydd hir eiddunir i dda
SIR TOMAS; rhoed Duw, yma,
Hir oes, hedd, a'i ras iddo;
Gwych ei fyd, ac iach a f'o.
Bendithion Ion y wiwnef,
Ar ei dir, a'i Aerod ef.
O blaid ei ddeiliaid, llaw'dd Ion;
A bo woseb i'w weision.
O'i roddion gwiw a diwael,
Arch o'i goed a ercha'i gael.
A da'r cof, wedi'r cyfan,
MAUGHAN am goed, minau am gân.

DEWI, wrth fyned heibio

*Y Sadwrn olaf o*
*Ionawr*, 1820.

PETER EVANS, ARGRAFFYDD, CAERNARFON.